ETHOLIAD ARLYWYDDOL 1872.

# Grant vs. Greeley.

BARN GREELEY AM EI BLEIDWYR AC AM GRANT--BARN J. A. DIX, AM GREELEY, &c., &c.

## AT Y CYMRY.

Yr ydym yn anfon Annerch at Gymry Gweringarol y Talaethau Unedig, gan ofyn eu cydweithrediad i sicrhau etholiad y Cadfridog U. S. Grant a'r Anrhydeddus Henry Wilson. Ni fu adeg erioed yn hanes ein gwlad yn hawlio cymaint o sylw a gweithgarwch dinasyddion egwyddorol a goleuedig a'r adeg bresenol. Pan y mae egwyddorion ein Gweriniaeth mewn perygl—pan y mae y rhyddid a enillwyd mor ddrud drwy dywalltiad gwaed ein dewrion ar feusydd rhyfel yn cael ei fygwth—y mae yn ddyledswydd ar bob gwladgarwr ddyfod allan yn ei nerth i amddiffyn a dyogelu yr hyn a enillwyd, ac i sicrhau sylfeini llwyddiant gwladwriaethol yn y dyfodol. Ein hamcan yn y pamphledyn hwn, ac mewn eraill a ddylynant ydyw gosod pynciau y dydd yn eu lliwiau priodol o flaen dinasyddion Cymreig America. Yr ydym yn rhwymo ein hunain i ymgadw yn gaeth at y gwirionedd. Ni fydd i ni roddi un gosodiad i lawr heb ffaith yn sylfaen iddo. Bwriadwn oleuo y deall, fel ag y byddo barn oleuedig yn canlyn. Nid oes angen yn yr ymdrechfa hon i ni ofyn am gynorthwy dychymyg ffrwythlon nac ymenydd penboeth, oblegid fel perllan yn yr haf pan y byddo y coedydd yn plygu eu penau dan bwys y ffrwythau, y mae y maes gwleidyddol yn orlawn o ffeithiau addfed—pob ffaith yn sail i egwyddor a phob egwyddor yn sail i argyhoeddiad. Yn nghwrs ein hymdriniaeth bydd i ni ddangos yr hyn y mae y blaid Werinol wedi ei gyrhaedd yn yr amser a aeth heibio, a'r sicrwydd presenol sydd genym o'r hyn a gyrhaedda yn y dyfodol. Cyffyrddwn, nid yn ysgafn ychwaith, a'r blaid Ddemocrataidd. Dangoswn hi yn mhangfeydd marwolaeth--ar dynu yr anadl olaf, ond yn derbyn yr adgyfnerthiad sydyn a bywiog drwy ymuniad Horace Greeley a hi. Daliwn Horace Greeley yn ngoleuni ei gymeriad ei hun, profwn ef drwy y geiriau a ddyferodd dros ei ysgrifbin ei hun; cyferbyniwn Horace Greeley ymgeisydd y blaid Ddemocrataidd ag Horace Greeley yr amser gynt, ac ymdrechwn ddangos y pris y mae yr hen wron yn orfod dalu er sicrhau y gwaradwydd a fydd yn eiddo iddo am oesau i ddyfod. Yr ydym yn addaw i ni ein hunain ac i'n darllenwyr ddyddordeb mawr wrth ail-adrodd yr hyn a arferai Horace Greeley ei ddatgan am y Democratiaid, a'r hyn a arferai y Democratiaid ei ddatgan am dano ef. Ni fydd ini anghofio hefyd i daflu golwg dros gymeriad pleidwyr presenol Greeley. O'r braidd y gellir credu y bydd i ni ddangos fod elfenau isaf a mwyaf llygredig gwleidyddiaeth, gormeswyr y caethion, bradwyr rhyddid, gelynion yr Undeb, lladron Efrog Newydd, a phob Pabydd bron yn y wlad yn bleidiol i Horace Greeley; ond felly y mae. Fel y dywedasom o'r blaen, ni fydd i ni fod yn euog o ddim ond o gyhoeddi y gwirionedd, ac at y gwirionedd yr ydym yn galw sylw diragfarn pob dinesydd Cymreig yn ngwlad y Gorllewin. Boed i Gymry America ddyfod allan y tro hwn yn deilwng o honynt eu hunain. Nis gall un gwladgarwr, gyda chydwybod rydd, blethu ei ddwylaw mewn difaterwch. Deued pawb allan yn eu llawn arfogaeth gan gyhwfanu baner Gweriniaeth o dan arweiniad Grant a Wilson. Dyrchafer llef yn Nhalaeth Efrog Newydd dros Grant a Wilson; ychwaneger at ei nerth yn Mhennsylfania, Ohio, Wisconsin, Illinois, Iowa, Minnes-

E675
E5?



oia, a chaffed ei hadsain dderbyniad calonwresog gan Gymry gwlad yr aur tu draw i'r Mynyddoedd Creigiog.

## PERYGL Y WERINIAETH ODDIWRTH Y LEIAFRIF.

Onid y mwyafrif mewn Gweriniaeth sydd i lywodraethu? Ie: ac eto y mae cyfanrwydd y Weriniaeth, a bodolaeth ein sefydliadau rhyddgarol mewn perygl dirfawr oddiwrth y lleiafrif! Mae yn dra thebyg fod syniad fel hwn yn swnio yn ddieithr i filoedd, ond yr ydym yn credu fod arwyddion yr amserau, wrth sylwi arnynt yn ngholeuni y mynedol, yn ein cyfeirio at y drwg, ac yn ein rhybuddio rhag cymeryd ein llusgo i ddinystr gan ynfydion anfoddog sydd bob amser yn twyllo y diniwed, nes y byddo pawb yn cael eu tynu i lawr i ddinystr anadferadwy.

Y mae y perygl hwn yn codi o'r duedd sydd yn y lleiafrif i fynu llywodraethu y mwyafrif, "RULE OR RUIN" yw eu harwyddair. Felly y mae wedi bod yn America, i raddau mwy neu lai er ys deng-mlynedd-ar-hugain. Y mae yr ysbryd drwg a pheryglus hwn wedi gwneyd ei ymosodiadau ar bob adran o'n Sefydliadau; a phe buasai wedi llwyddo yn ei amcanion bradwrus, afresymol, a diddeddf, buasai holl ranau Cymdeithas yn un ymchwalfa, a dinystr yn llygadrythu yn wyneb pob dinesydd o'r St. Lawrence i'r Rio Grande, ac o'r Werydd i'r Tawelfor.

Dyro dy law i ni ddarllenydd—yn neillduol y canoedd Cymry sydd wedi dyfod atom yn y deng mlynedd diweddaf—rhowch eich llaw, a goddefwch i ni eich tywys yn ol am ychydig flynyddoedd yn hanesyddiaeth ein gwlad. O'r flwyddyn 1848 i'r flwyddyn 1850, gwelwn y lleiafrif Caethwasiol yn rhwygo y Gymdeithas Draethodol Americanaidd yn ddwy, am fod y mwyafrif wedi penderfynu cyhoeddi Traethodyn yn erbyn Caethwasiaeth,—ychydig cyn, neu wedi hyny, wele yr un ysbryd yn hollti eglwys Dduw, ac yn rhedeg y MASON AND DIXON LINE drwy ei chanol, fel nad oedd yr un cymundeb rhwng yr Eglwysi yn y De a'r rhai yn y Gogledd, mwy na phe buasai y naill yn ddeiliaid teyrnas Crist, a'r llall yn eiddo teyrnas y Tywyllwch! Ymledodd yn gyflym, nes oedd yn 1860 wedi dargreiddio holl ranau y BODY POLITIC; a theimlodd y lleiafrif yn ddigon haerllug i ymarfogi, ac amcanu dryllio cyfanrwydd Undeb gogoneddus y Talaethau, drwy hyrddio un rhan o'r wlad i'r Gwrthryfel mwyaf annaturiol ac annuwiol, er bytholi y Gaethwasiaeth felldigedig yn y tir! Buwyd am bedair blynedd hirfaith yn darostwng y gwrthryfel; a thybid gan filoedd fod yr anghenfil lleiafrifol wedi ei ladd am byth pan ddiarfogwyd ei ymddiffynwyr gan y CAD. U. S. GRANT, o dan y pren afalau, yn Appomattox; ond erbyn heddyw yr ydym yn ei gael mor fyw ag erioed, ac yn bwgwth holl sefydliadau rhyddfrydol y Weriniaeth, gan ein taflu yn ol eto i'r un safle, neu i safle waeth, nag oeddem ynddi yn 1860. Y mae y tro hwn wedi codi ei ben mewn man nad oeddem yn dysgwyl am dano. Mae wedi ymddangos y tro hwn yn rhengau y Blaid Werinol! Mae y syniad—mai y lleiafrif sydd a hawl i Lywodraethu, y tro hwn yn cael ei bersonoli yn Sumner drahaus a isfalch, yn Schurz ddialgar, yn Trumbull anffyddlon, ac yn Greeley anwadal ac uchelgeisiol. Ar ddyrchafiad yr Ar-Lywydd Grant i'r Tŷ Gwyn, yr oedd Sumner yn barod i gymeryd ysgrifbin y SECRETARY OF STATE yn ei law, ac nid oedd yn tybied y buasai un dyn byw yn amheu ei hawl i'r Swydd---yr oedd Schurz yn tybied y gallasai yntau gael holl BATRONAGE y Llywodraeth yn Missouri---Trumbull yr un fath yn ei Dalaeth yntau--a Greeley "poor fellow," yn edrych yn obeithiol am Swydd y Post-Feistr Cyffredinol, ac wrth reswm i gael penodi holl Bost-Feistri y Talaethau. Ond yn lle cymeryd ei arwain gerfydd ei drwyn gan y "quartette" hwn, fe fu yr Ar-Lywydd yn ddigon doeth i'w hysgwyd ymaith, ac y maent hwythau wedi bod yn ddigon bradwrus i gynyg rhwygo y Blaid Werinol, am yr unig reswm na chawsant hwy redeg y Weinyddiaeth. Yr un hen egwyddor felldigedig sydd yn eu hysgogi ag a barodd i'r Deheuwyr godi yn fradwyr arfog, gan ymgynyg am fywyd y Llywodraeth. Gwir mai y lleiafrif mewn plaid ydyw y rhai hyn, ac nid y blaid sydd yn y lleiafrif; ond credwn fod y perygl yn fwy oherwydd hyny, gan mai yn y "man-ymbleidio" yma y mae elfenau ymchwaliad cymdeithas yn ein golwg ni yn fwyaf tebyg o lwyddo. Gwelwn hyn yn mhob plaid, ac i raddau mwy neu lai, yn mhob cymdeithas. Ceir y dynionach hyn, fel cancr yn llygru pob cymydogaeth. Ceir hwynt yn y blaid Werinol Genedlaethol; ceir hwynt yn y gwahanol Dalaethau, megys yn Pennsylvania, yn cael eu harwain gan y Philadelphia "Press;" yn Efrog Newydd yn cael eu harwain gan y Seneddwr Fenton a'r 'Tribune;' yn Missouri yn cael eu harwain gan y Meddwyn, B. Gratz Brown &c., &c.; a cheir hwynt yn y gwahanol Siroedd a dinasoedd, i raddau mwy neu lai drwy yr holl Dalaethau. Ond nid yw 'yr elfen hon yn gyfyngedig i'r blaid Werinol mewn un modd. Ceir yr un dynion yn y pleidiau eraill; ac y mae pawb yn hysbys fod rhyw haner dwsin o bleidiau wedi penodi ar Docyn Cenedl

aetholi ymgeisio am yr Ar-Lywyddiaeth yn Tachwedd nesaf. Y mae genym y Gwerinwyr, y Gwerinwyr Tammanaidd Democrataidd, y Diwygwyr Llafur, yr ANTI-SECRET-SOCIETY, y Dirwestwyr a'r Iawnderau Menywod! A dysgwylir y ceir Tocyn eto gan yr hen Ddemocratiaid yn Louisville Ky., yn y mis nesaf!!

Cynyddu y mae yr ymbleidio fwy-fwy, ac nid oes allu ar y ddaear all rwystro i'r manbleidiau hyn ymarfogi yn finteioedd ysbeilgar o dan lywyddiaeth eu blaenoriaid diegwyddor, ond drwy i'r Werin ymglymu mewn undeb heddychlawn, a phenderfynu na chaiff y fath ellyllon byth eu twyllhudo i'w dylyn i'r fath droseddau damniol a pheryglus i heddwch, llwyddiant a chysur, a hyd yn nod, bodolaeth y Weriniaeth. Edrychwn i'r De-Orllewin i ni—ar ein Chwaer-Weriniaeth, Mexico—Gwelwn yno yr hyn ydym yn ei ofni mewn llawn weithrediad! Gwelwn flaenoriaid y man-ymbleidiau wedi arfogi eu canlynwyr rhy ewyllysgar, ac yn rhuthro yn erbyn y Llywodraeth, ac yn ysbeilio cyfaill a gelyn heb wahaniaeth. Yr un egwyddor sydd yn eu cynhyrfu i gyflawni eu hanfadwaith cythreulig ag sydd yn llenwi mynwes blaenoriaid y man-ymbleidiau yn y Talaethau! Ac nid oes eisiau dim ond arfogi y pleidiau yma fel yn Mexico, na fyddai yr holl wlad eto yn afonydd o waed.

Diameu y ceir rhai i watwar y syniad hwn, ac yn barod i grochfloeddio "Heddwch, heddwch," ond os na egyr y werin ei llygaid yn fuan iawn, ni phetruswn eu rhybuddio fod yr amser yn ymyl pan y gwaeddir "Heddwch, heddwch," a dim gobaith AM heddwch. Yr ydym yn credu fod corff y bobl yn onest ac yn caru rhyddid, cyfiawnder, a heddwch; ac eu bod yn caru sefydliadau y wlad i'r fath raddau fel y rhoddent eu heinioes i lawr mewn amddiffyniad iddynt; ond pa beth allant wneyd os goddefant i Horace Greeley, Charles Sumner, Carl Schurz, B. Gratz Brown, Frank Blair, Jeff. Davies, a lladron melldigedig y Tammany Ring, eu rhanu yn fanbleidiau? Ein hunig obaith am ddiogelwch ydyw ymuno yn un llaw mewn undeb a phlaid sydd wedi ei phrofi genym am 12 mlynedd, a thaflu ein pleidlais unfrydol dros GRANT A WILSON am yr Ar-Lywyddiaeth a'r Is-Lywyddiaeth am y term nesaf eto.

At Gymry y wlad y mae ein llais; ar Gymry y wlad yr ydym yn galw! Gydwladwyr hoff,—disgynyddion yr hen Frythoniaid! Na thwyller chwi. Y MAE perygl, ond na fydded un Cymro yn un man yn gefnogydd i'r BOLTERS a'r DISORGANIZERS. Gallwch fod yn sicr mai hunan-ddyrchafiad sydd yn eu golwg bob un; ac ni phetrusant gyflawni pob budrwaith, a thwyll a throsedd, er cyraedd eu hamcanion. Chwi newydd-ddyfodiaid, arafwch! ystyriwch mai gwaith oes ydyw deall cysylltiadau mesurau gwleidyddol, ac ymgynghorwch a'r hen Sefydlwyr. Bydd yn ddiogel i chwi fyned yr un ffordd a hwythau, ond os mynwch gymeryd llwybrau dieithr, cofiwch eich bod wedi cael eich rhybuddio yn garedig gan un sydd wedi cyd-dyfu a sefydliadau y wlad. Dyma i chwi oll eich dewisiad—Greeley a Brown a thrueni, neu GRANT A WILSON a pharhad o'n dedwyddwch a'n llwyddiant presenol. Beth a fynwch yn well na sydd genych?

---

## LLYTHYR Y CADFRIDOG JOHN A. DIX AR BWNC YR ARLYWYDDIAETH.

Nis gallwn gyfeirio meddyliau ein darllenwyr at ddadleniad eglurach o wendidau Horace Greeley fel ymgeisydd Arlywyddol nag a geir yn y llythyr sydd yn canlyn, oddiwrth John A. Dix at A. B. Cornwell. Y mae y Cadfridog Dix nid yn unig yn uchel mewn enwogrwydd milwrol, ond yn wleidyddwr goleuedig, yn wladgarwr gwresog a gonest ac yn feddyliwr galluog. Wele y llythyr.

Gorphenaf 27ain, 1872.

ANWYL SYR:—Y mae eich llythyr, dyddiedig y 14eg, yn gofyn am fy nghynorthwy i sierhau siaradwyr erbyn y Cyfarfod Greeleyaidd yn Hancock, wedi ei dderbyn genyf tra yr oeddwn yn New England, ac yr wyf wedi bod yn analluog hyd yn hyn i gydnabod y derbyniad.

Nid wyf yn deall ar ba gyfrif y darfu i chwi awdurdodi eich hunain i anfon y fath gais ataf. Pe buasech wedi ymgynefino gyda chwrs fy mywyd cyhoeddus, yn gystal ag eiddo Mr. Greeley, ni fyddai i chwi dybio y gallaswn I gefnogi ei etholiad ef i'r Swydd Arlywyddol, heb fy nghyhuddo o gefnu ar bob egwyddor wleidyddol.

Yr wyf yn wrthwynebol i Mr. Greeley yn

1. Am y credwyf ei fod "mor ansefydlog a dwfr." yn ymsiglo yn barhaus—i gario allan y gymhariaeth ysgrythyrol—rhwng tonau gwahanol opiniynau, ac yn ddiffygiol yn yr holl anhebgorion sydd yn hanfodol er sicrhau Gweinyddiaeth Gadarn, sefydlog a chyson o'r Lywodraeth.

2. Am ein bod yn ei gael yn mhlith y rhai mwyaf eithafol ar y prif bynciau cymdeithasol a gwleidyddol ag sydd wedi cael eu dadlenu yn ystod y chwarter canrif diweddaf

3. Am ei fod wedi ac yn cefnogi y gyfundrefn fasnachol anghyfiawn hono ag sydd yn dinystrio ein masnach longawl a threfnadol ac yn gosod cyfoeth aruthrol yn nwylaw dosbarth neillduol, er fod pawb eraill drwy hyny, yn cael eu gorthrymu a'u tylodi.

4. Am ei fod yn dal cysylltiad, i raddau mwy neu lai, a rhai o brif ysbeilwyr dinas New York. yr hyn sydd yn cyfiawnhau y syniad, cherwydd ei gyfathrach a hwynt, neu ei dymheredd ei...

mwyth naturiol, y bydd yr un gyfundrefn o dwyll a llygredigaeth ag sydd wedi anurddo Gweinyddiaeth dinas New York yn cael ei chario allan i eithafion mwy haerllug a chywilyddus yn Ngweinyddiaeth y Llywodraeth Gyffredinol.

5. Am iddo annog yn gyhoeddus y cynllun llwfr o beidio gwrthwynebu toriad yr Undeb, eithr yn hytrach cydsynio i'r Talaethau Deheuol fyned allan pryd bynag y byddent yn dewis, a hyny yn awr dywyllaf perygl ein gwlad, a phan oedd y bradwyr yn cyd-ddyfeisio i ddymchwelyd y Llywodraeth.

Y mae y Cyfundeb ag sydd wedi ei ffurfio i gefnogi ei etholiad yn un o'r rhai mwyaf hynod yn hanes pleidiau gwleidyddol, nid yn unig am ei fod yn cynwys cynifer o elfenau gwrthwynebol, ond am ei fod yn taflu i fyny bob egwyddor wleidyddol.

Dyna Gynadledd Cincinnati, yr hon a alwyd i osod o flaen y bobl fesurau pwysig o ddiwygiad, yn ei ethol ef, er syndod i'r holl wlad, a chan wybod ei fod yn wrthwynebydd eithafol i un o'r mesurau hyny—yn ei ethol hefyd yn erbyn dymuniad a barn blaenoriaid y mudiad, y rhai a'i derbyniasant gydag anfoddlonrwydd amlygedig neu guddiedig, yr hyn a fuasai yn fwy clodfawr iddynt, pe na buasai eu derbyniad o hono yn hollol anghyson a'u hegwyddorion.

Darfu i'r Gynadledd Ddemocrataidd yn Baltimore ei gymeradwyo i dderbyn cefnogaeth y blaid—nid fel un ag oedd yn gweithio allan yr egwyddorion a broffesir ganddynt hwy neu y mesurau a ddygant yn mlaen i sylw y wlad, ond fel gwrthwynebydd chwerw a chyhoeddus i'r cyfan—y dyn hwyrach, o bawb eraill, ag sydd wedi ymosod ffyrnicaf ar Ddemocratiaeth, gan wadu ei gonestrwydd, dadlenu ei chuddfwriadau, a pharddu ei chymeriad.

Y mae eu dewisiad o'r fath ddyn fel eu hymgeisydd am swydd uchaf yr Undeb, yn un o'r engreifftiau amlycaf o "werthu egwyddorion" ag a ellir gael ar faes gwleidyddiaeth. Y mae y mater eto yn aros prawf pa un a fydd corff mawr y pleidleiswyr Democrataidd a gwir gyfeillion diwygiad yn penderfynu cefnogi y fath gytundeb gwarthus rhwng y gwahanol arweinwyr politicaidd.

Fod y Cadfridog Grant wedi gwneyd rhai camgymeriadau, sydd ffaith a addefir gan ei gyfeillion cywiraf; ond pe byddai ei ffaeleddau yn bedair gwaith lluosocach, gwnelai yn ol fy marn I, Arlywydd llawer dyogelach na Mr. Greeley. Y mae yn barod wedi gwneuthur llawer iawn yn y swydd hon ag sydd yn teilyngu diolchgarwch y wlad. Uwchlaw pob peth y mae wedi sicrhau heddwch er pob ymdrech a wnaed gan amryw newyddiaduron a gwleidyddion i gyneu tân rhyfel a'r Yspaen o barthed i Cuba, ac a Phrydain Fawr o barthed i ofynion yr Alabama.

Os heb ystyried y profion hyn o'i hawl ar gefnogaeth ei gyd-ddinasyddion ac o'i wasanaeth anmhrisiadwy yn ystod y rhyfel diweddaf, y gosodir ef o'r neilldu i roddi lle i Mr. Greeley; os dygwydd i'r olaf, nad yw yn ddim amgen na gwleidyddwr ansefydlog, ac heb ond ychydig brawf mewn gwasanaeth cyhoeddus—os dygwydd iddo ef gael ei ddyrchafu i swydd uchaf yr Undeb—Undeb na fyddai mewn bodolaeth yn awr pe dilynasid ei gynghorion ef, ac os bydd i'r hwn, o bawb eraill, sydd wedi gwneuthur cymaint i gadw yr Undeb yn fyw i gael ei dori o'r neilldu er rhoddi lle i olynydd mor anghymwys yr hwn a benodwyd ac a gefnogir mor anghyson, byddai yr esiampl yn dylanwadu yn anffafriol ar egwyddorion puraf gweithrediad gwleidyddol ac yn cyfiawnhau yr ofnau mwyaf poenus yn y dyfodol. Ydwyf yr eiddoch yn barchus,

John A. Dix.

A. B. Cornwell Ysw, Hancock, N. Y.

---

# Horace Greeley a'r Blaid Ddemocrataidd

## *BARN Y NAILL AM Y LLALL!*

### Y'DDAU YN CYHOEDDI HEDDWCH!

Un o ryfeddodau gwleidyddol yr oes hon ydyw mynediad Horace Greeley drosodd at y Democratiaid. Horace Greeley—un o dadau Gweriniaeth a sylfaenydd y *New York Tribune* wedi cefnu ar y blaid ogoneddus y perthynai iddi, ac wedi ymgynghreirio a'r blaid y bu mor elynol iddi am ugain mlynedd. Horace Greeley—prif amddiffynydd y Ddiffyndoll, egwyddor fawr ei fywyd cyhoeddus, yn sefyll ochr yn ochr a chefnogwyr Masnach Rydd! Y mae y cyfnewidiad braidd yn anesboniadwy. Nis gwyddom am neb a safai yn uwch yn syniadau y Cymry nag Horace Greeley. Yr oeddem oll wedi ein dysgu i'w barchu a'i anrhydeddu, oherwydd ei ymlyniad wrth iawnderau dyn, oherwydd ei gynorthwy i'r gorthrymedig, ac oherwydd ei ddynoethiad llym o'r blaid Ddemocrataidd. Defnyddiodd ef ei amser prisfawr, ei alluoedd mawrion a'i gyfleusderau helaeth, ar yr esgynlawr a thrwy y wasg i ddal y Democratiaid i fyny yn ngoleuni gwirionedd. Dangosodd i ni drachefn a thrachefn fod y blaid hon wedi sefyll ar ffordd rhyddid dyn, wedi ymdrechu ei goreu i dynhau cadwynau y gorthrymedig, ac wedi sefyll ar yr ochr nacaol i bob mesur, mudiad ac egwyddor ddiwygiadol.

I ddangos cymeriad y Democratiaid ac adgasrwydd Greeley atynt, cyhoeddwn ddifyniadau yn egluro

BARN HORACE GREELEY AM DDEMOCRATIAETH

cyn iddo gael ei benodi gan y blaid hon yn ymgeisydd am yr Arlywyddiaeth.

"Mae hen ddiareb sych Ysgotaidd yr hon a ddywed, 'Rhaid i'r hwn a yfo gawl gyda y diafol wrth lwy hir.' Mae naw o bob deg o'r lladron profedig, yspeilwyr, ffoadnriaid rhag cosb gyfiawn, ac eraill nad oes ganddynt yr un hawl i bleidleiso yn ein dinas, ac nas gallant byth ddyfod i hawl gyfreithlon, yn glynu gyda chydymdeimlad greddfol a'r blaid Loco-Foco."

"Tribune" am Chwef. 12, 1842.

---

YR HYN A WYDDAI AM Y BLAID DDEMOCRATAIDD YN 1843.

Pan yr arferai Dinasyddion America ymgrynhoi wrth y canoedd i ganu a dawnsio o amgylch Pawliau HICORY, gyda barilau o chwisci wedi eu rhowlio allan, a barilau o gwrw yn cael taro eu penau i mewn—pan, yn y fan hon, yn y ddinas oleuedig hon, y gwelid dynion, wedi iddynt dywallt casgenaid o gwrw i'r twll lle y bwriedid rhoddi y Pawl o flaen Neuadd Tammany, yn gorwedd i lawr ac yn ei yfed o'r twll yn y ddaear fel moch—nid oedd y Kinderhopper yn canfod dim gwaradwyddus. Pan y cafodd Dinasyddion Americanaidd eu gyru ymaith oddiwrth yr etholflwch gan bastynau yn nwylaw tramoriaid twylledig, haner gwareiddiedig, a wallgofwyd gan wirodydd meddwol a ddarparwyd iddynt gan haelioni y blaid, ni chawsom un awgrymiad gan Mr. Van Buren fod y fath olygfeydd yn waradwyddus, ac yn tueddu i amharu ymddiried dynolryw yn ein haddasrwydd i gael sefydliadau rhyddfrydig. Pan y mobiwyd dynion a deimlent eu dyledswydd i ddwyn eu tystiolaeth yn erbyn caethwasiaeth am wneyd felly yn heddychol, ac y saethwyd perchenog Gwasg Rydd i lawr yn ei dy ei hun am amddiffyn ei wasg rhag cael ei dinystrio gan haid o ellyllon, y rhai a dybient y buasai yn cael ei defnyddio yn erbyn caethwasiaeth, nid oedd y coegyn hwn yn gweled dim yn tueddu i wanhau ymddiried yn ein haddasrwydd i lywodraethu ein hunain; ond dywedodd yn ddifater yn ei Urdd-araeth "fod anystyriaeth fyrbwyllog o ganlyniadau eu hymddygiadau wedi gwneyd personau yn nodau digofaint y bobl."—"Tribune" Mch. 1843.

---

YR HYN A WYDDAI HORACE GREELEY AM Y BLAID DDEMOCRATAIDD YN 1851.

"Yn yr amser a basiodd y mae plaid boliticaidd yn yr Unol Dalaethau, wedi gwneyd difodiad arian papyr a sefydliad hollol arian metelaidd yn rhyfelgri. Ni waeth beth fyddo eu honiadau, nid yw eu mesurau yn y cyfeiriad hwn, fel yn mhob cyfeiriad arall, yn tueddu ond i gryfhau gallu arian, lleihau gwobr Llafur, a chyflwyno y lluaws, yn ddiamddiffyn ac analluog i wrthwynebu, drosodd i drugaredd tyner cyfalafwyr ac usurwyr."—"Tribune" Chwef. 12, 1851.

---

YR HYN WYDDAI HORACE GREELEY AM Y BLAID YN MAWRTH 1855.

"Mae yr etholiad hwn yn datguddio yr hyn a ddengys etholiadau mewn manau eraill yn y Gogledd, fod yr hen blaid Ddemocrataidd wedi ei darostwng i ysgerbwd, ac nas gall yn un lle wrthsefyll ei Gwrthsafwyr, os gwna yr holl elfenau gwrthwynebol ymuno. Mae y blaid hon sydd wedi bod cyhyd yn anorchfygol drwy swyn ei henw, a dysgyblaeth ei chyfansoddiaeth, wedi ei stripio o'i nerth ac yn crynu a'r ddibyn ymddatodiad. Os bydd yr Opposition yn ddoeth, gellir ei difodi ag un ergyd. Mae yn bosibl i'r cyngrair mawr bradwrus, ar enw Democratiaeth, sydd wedi meiddio taraw ergyd tadladdol at achos Rhyddid a Diwygiad ar y Cyfandir hwn, gael ei hollti ei hun yn ddarnau yn y weithred. Mae yn amser pan y dylai manbethau gael eu hanghofio, a phan y dylai pawb uno i gwblhau dymchweliad yr archfradwyr hyn, sydd yn proffesu, yn eu hiaith eu hunain, eu bod yn credu mai 'nigger era' ydyw y cyfnod hwn, ac ydynt wedi sefydlu arbrawf ar y grediniaeth gyhoeddus, a thyb y cyhoedd am yr hyn sydd iawn. "Tribune" Mawrth 15, 1855.

---

*Darlun o'r Deheuwyr.*

"Bydded i'r milwr ddeall ei fod wedi ei alw i ymladd a bradychwyr, pob un o honynt yn teilyngu eu cyhuddo o flaen llys barn, eu profi, eu condemnio a'u crogi—dynion ydynt wedi aflonyddu yn ddiachos ar heddwch y byd—dynion na ddylid gwneuthur un telerau a hwynt—"Dick Turpins" yn galw eu hunain yn Gadfridogion—"Capt. Kyds" yn galw eu hunain yn arweinwyr! Y mae lleidr yn lleidr—celwyddwr yn gelwyddwr—anudonwr yn anudonwr; y mae pob un o'r bradwyr Deheuol y tri yn un! Na foed i ni glywed rhagor am gamarweiniad ein brodyr Deheuol." Y mae un peth nas gall llwyddiant y De ei sicrhau, hyny yw, annghofrwydd, mewn hanes neu draddodiad, o'r twyll, yr anwiredd a'r troseddau gyda'r rhai y dechreuwyd yr anturiaeth warthus. Y mae y bradwyr hyn tuallan i barch y byd am byth."—*Horace Greeley*, Awst 16, 1862.

---

*Cartrefle Democratiaeth.*

"Cyfeiriwch lle y mynoch at ranbarth etholiadol a gyfrifir genych yn foesol

lygredig, wedi ei roddi i fyny i raddau helaeth i droseddau a thrythyllwch, y pleidleiswyr yn byw wrth gadw "gambling-houses," "grog-shops" a lleoedd craill mwy melldigedig, a bydd y rhanbarth hwnw yn mhob etholiad yn rhoddi y mwyafrif i'r blaid a eilw ei hun yn Ddemocrataidd."—*Horace Greeley*.

---

*Democratiaeth a'r "Grog-shops."*

"Y mae pob dyn ieuanc ag sydd yn dysgu llymeitian yn y "grog-shops," yn ymarfer ei hun i ffyrdd Democratiaeth. Hwyrach fod ei rieni rhinweddol yn wahanol—hwyrach nad ydynt yn gwybod am ei gyrchleoedd a'i arferion; ond os ydyw yn dysgu hoffi gwirod a chwmni drwg, y mae yn parotoi ei hun i ateb dybenion ei elyn. Oherwydd hyn, y mae arweinwyr y blaid Ddemocrataidd bob amser yn casbau ac yn rhyfela yn erbyn Dirwest. Y maent yn ymwybodol fod llwyddiant Dirwest yn sicrwydd o aflwyddiant iddynt hwy. Nid oes Dalaeth yn yr Undeb nad yw y blaid Ddemocrataidd ynddi yn flaenllaw mewn gwrthwynebiad i bob cyfraith ag sydd yn tueddu i leihau nifer y "grog-shops."—*Horace Greeley*.

---

*Beth fydd canlyniad dychweliad y Democratiaid i awdurdod.*

"Y mae llwyddiant y blaid Ddemocrataidd yn y Talaethau yn rhag-dybio ailfeddiant o awdurdod gan y rhai hyny a adawsant eu heisteddleoedd yn y Gydgynghorfa a lleoedd craill o anrhydedd i hyrddio y wlad i Fôr Coch ymraniad a gwrthryfel. Gallwch baentio hyd fodfedd o drwch os mynwch, ond dyma fydd y lliw wedi y cyfan,—Ymenydd, calon ac enaid y blaid Ddemocrataidd ydyw yr elfen wrthryfelgar yn y De, yn nghyd a'r rhai sydd yn cydymdeimlo a hwynt yn y Gogledd. Y mae y blaid hon o galon yn wrthryfelgar heddyw. Deuai i awdurdod gyda chasineb, siomiant a digofaint deng mlynedd i'w chynhyrfu a'i harwain yn ei llwybrau. Ymroddai i dynu ymaith dreth ar ol treth nes y byddai y Trysorlys yn rhy wag i dalu y llog ar y ddyled wladol, a derbyniai y ffaith o fethiant cenedlaethol gyda llawenydd a gorfoledd mawr. Pa gerydd bynag a haeddir genym am ein pechodau cenedlaethol, rhaid i ni obeithio na ddaw y gwarth a'r gwaradwydd hwn ini."—*Horace Greeley*, Chwefror, 1871.

---

*Darlun dymunol a phrydferth.*

"Yr ydym yn gofyn i'n cyfoesydd (*New York World*) i ateb yn ddigel pa un a yw yr ymladdwyr, y lladron, torwyr tai a'r rhai sydd yn cadw tai i ferched syrthiedig bron bob un yn Ddemocratiaid."—*Horace Greeley*.

---

*Rhinweddau Democrataidd.*

"Y mae ysmocio yn rhinwedd Democrataidd; y rhinwedd hwn mewn ffurf mwy angerddol ydyw cnoi tobacco; ac yfed *rum* yw yr un rhinwedd wedi ei gario i'r graddau uchaf."—*Horace Greeley*.

---

*Pwy wnaeth y ddyled a phwy dywalltodd y gwaed.*

"Dylai pob doler o'r ddyled wladol a phob dyferyn o waed a dywalltwyd gael ei gyfrif i'r blaid Ddemocrataidd."—*Tribune*, Mehefin 27, 1868.

---

*Cysur i Bleidwyr Horace.*

Os bydd i chwi bleidleisio y tocyn Democrataidd, peidiwch a dweyd nad ydych yn eich calon a'ch teimlad yn *rebel* ac yn fradwr; oherwydd yr ydych.—*Tribune*, Mehefin 7, 1868.

---

## BARN GREELEY AM GRANT.

Mewn araeth a draddododd Horace Greeley ar y 5ed o Ion. 1871, dywedodd: "Tra yn amddiffyn hawl pob Gwerinwr i'w ddewisiad anghyfyngedig o ymgeisydd am Arlywydd nesaf hyd nes y gwneler penodiad, yr wyf fi yn anturio awgrymu y bydd y Cad. Grant yn llawer mwy cymhwys i'r ymddiried pwysig hwnw yn 1872 nag ydoedd yn 1868."

"Teilynga y Cad. Grant a'i wladlywiaeth y credyd uchaf."—*Horace Greeley*.

"Mae pobl y Talaethau Unedig yn gwybod am y Cad. Grant—wedi gwybod pob peth am dano er's Donaldson a Vicksburg; nid ydynt yn adnabod ei enllibwyr nac yn gofalu am eu hadnabod."—*Horace Greeley*.

*Golygiadau Gwleidyddol Grant.*

"Mae y dynion sydd yn cymeryd arnynt feddwl nad yw Grant yn filwr ac nad oes ganddo ymenydd ond yr hyn a echwynwyd iddo gan McClernand, yn hoff o gyhoeddi hefyd na bu ganddo erioed unrhyw olygiad gwleidyddol, ac nad oes ganddo un ddirnadaeth am yr hyn a ofynir mewn llywodddysgwr. Nid yw erioed wedi ystyried mai ei ddyledswydd ydyw chwyfio ei olygiadau ar amgylchiadau cyhoeddus yn ngwynebau ei gyd-ddinasyddion; ond fod ei opiniwnau ar gwestiwnau mawrion y dydd wedi bod o hyd yn bendant a diogel, yr ydym yn ddyddiol yn cael prawf newydd.

Gwnaeth y Gydgynghorfa lawer iawn i sicrhau diogelwch y bobl ffyddlon yn y De, trwy osod y cyfreithiau yn fwy cyflawn nag o'r blaen yn nghadwraeth Cadlywydd gwladgarol ac ymddiriedol y Fyddin.—*Tribune*, Gor. 24, 1868.

---

*A ydyw Grant yn Fethiant?*

Ar ddyrchafiad y Cad. Grant i'r Arlywyddiaeth, yr oedd nifer mawr o'r rhai oeddynt wedi cefnogi ei etholiad, gyda rhai nad oeddynt, yn ceisio swyddi oddiar ei law, neu yn dysgwyl iddo roddi rhai heb iddynt ofyn am danynt. Yr oedd efe yn analluog i foddloni eu dyheuadau. Honai y nifer mwyaf o'r rhai a gafodd efe mewn swyddi eu bod hwynt wedi rhoddi eu pleidleisiau iddo; gwelodd yn gymhwys gadw rhai o'r cyfryw; tra yr oedd y cyfreithiau i'r rhai y mae yn was yn gofyn iddo leihau llawer ar draul y gwasanaeth cyhoeddus a'r nifer a roddid ar waith ynddo.

Yr oedd ein rhyfel mawr cartrefol wedi gwneyd ychwanegiad mawr yn angenrheidiol yn nifer y man swyddogion; yr oedd penderfyniad hawliau i dalwobrau, &c., wedi esgusodi cadw canoedd yn eu lle i fyny hyd derfyn tymor Mr. Johnson; ond yn awr yr oedd cyfraith a chyfiawnder yn cydalw am eu troi o'r gwasanaeth, er fficiddiad tra chyffredinol iddynt eu hunain. Yr oedd eu galarnadau, gan gael eu cymysgu gyda chrochlefau y siomedigion, yn gwneyd i fyny anghydgordiad poenus, yr hwn yr oedd a ganlyn yr unig ystyr a ellid roddi iddo: "Mae y Cad. Grant wedi ei gael yn ddiffygiol—mae ei weinyddiaeth yn feddiant?"

"Yn fethiant?" Pa fodd? Yn mha beth? Ai nid oes genym heddwch a digonoldeb yn y tir? Ai ni arddangosir ac oni pherchir ein lluman yn mhob môr? Pa elyn tramor sydd yn ein blino nac yn ein bwgwth? Pwy sydd yn ofni terfysg gartref neu ymosodiad oddicartref? Yn mha un o'n 36ain Talaeth y mae y bobl mewn eisiau, yn anfoddog ac yn dyoddef? Ystyriwch ein sefyllfa gyllidol. Mae bron bob Talaeth a dinas yn talu ymaith y dyledion y rhedwyd iddynt wrth godi dynion at y rhyfel, tra mae y ddyled genedlaethol wedi ei lleihau agos i ddeng miliwn ar hugain yn y pedwar mis y mae y Cad. Grant wedi bod a'i law wrth y llyw. Mae y treulion cyhoeddus yn syrthio ymaith ar bob ochr, tra mae yr argyllid i fyny at fod yn ben llanw. Rhaid hyd yn nod i ryfeloedd Indiaidd, os yn anocheladwy, gael eu lleihau yn fawr o ran cost gan y cyfleusterau tuag at symud milwyr ac ystorfeydd a roddir gan ein dwy Reilffordd i'r Tawelfor.

Ydyw; mae y Cad. Grant wedi methu ateb rhai dyheuadau gorawyddus, a thrwy hyny tynodd arno ei hun beth casineb angerddol. Nid yw y rhai hyn wedi methu ac ni bydd iddynt fethu; a bydd i'w weinyddiaeth o leiaf brofi yn gydradd fywiol. Ni gawn glywed galarnad ar ol galarnad uwchben ei fethiant, oddiwrth y rhai y mae eu deisyfiad yn dad i'r meddwl; ond gadawa pobl America iddynt fyned heibio yn ddisylw. Mae eu breichiau cedyrn wedi ei ddwyn yn fuddugol trwy y Rhyfel ac i'r Ty Gwyn, ac y maent eto yn ei ddal i fyny. Nid ydynt erioed wedi methu ac ni fethant byth.—*Tribune*, Mehefin 30, 1869.

---

Diau ein bod wedi difynu llawn ddigon nid yn unig i ddangos pwy a pha beth yw y blaid Ddemocrataidd, ond i ddangos sefyllfa meddwl a barn Horace Greeley o barthed iddi. Gallasem gyhoeddi ugeinian o ddifyniadau yn ychwanegol, eithr i ba ddyben yr ymhelaethwn? Onid yw pawb yn gwybod fod Greeley a Democratiaeth fel pegynau y ddaiar—yn yr eithafion y naill oddiwrth y llall? Onid yw ei holl fywyd fel golygydd a gwleidyddwr wedi ei dreulio i ddangos gwendidau Democratiaeth? Ac onid yw y Democrat-

iaid o'r tu arall wedi bod yr un mor ddiwyd yn dadlenu cymeriad Horace Greeley. Gallasem ddifynu yn helaeth i ddangos fod y Democratiaid wedi rhoddi pob enw braidd ar Greeley. Galwyd ef ganddynt yn "wamal," yn "ansefydlog," yn "ddiffygiol mewn barn," "yn ddwfn yn anmhuredd a llygredigaeth, *Free Love*," "yn wallgof ar bwnc y ddiffyndoll," "yn elyn i'r Cyfansoddiad," "yn arch-elyn Democratiaeth," "yn hen wr yn dotio yn ei henaint," "yn freuddwydiwr," "yn gorffoliad byw o anghysonderau," &c., &c.

Ond rhyfeddod y bedwaredd ganrif ar bymtheg yw fod y ddau eithafion wedi dyfod yn nghyd fod y pegwn Gogleddol a'r pegwn Deheuol wedi cydgyfarfod o dau linyn y cyhydedd!

Y gofyniad naturiol yw: Beth sydd wedi achosi y cyfnewidiad a'r cydgyfarfyddiad rhyfeddol hyn? Beth yw y rheswm fod y "lladron," "yr anudonwyr," "yr hapchwareuwyr" a'r "bradychwyr" wedi penderfynu cofleidio "arch-elyn Democratiaeth," "y breuddwydiwr" a'r "corffoliad byw o anghysonderau?" Paham y mae Horace Greeley yn sefyll ochr yn ochr ar yr un esgynlawr a "pherchenogion *grogshops*," "yfwyr rum" a "chaseion y negro?" Beth yw y pris y mae Greeley yn ei roddi am gefnogaeth ei elynon? A pha beth yw enill y Democratiaid wrth gofleidio yr un a alwasant gynt yn "wamal," yn "ansefydlog" ac yn hen wr yn dotio yn ei henaint?" Paham na fuasai y Democratiaid yn penodi Democrat yn ymgeisydd?

Y mae yr atebion i'r gofyniadau blaenororol yn awgrymu eu hunain. Y ffaith alarus yw fod Horace Greeley er mwyn dyfod yn ymgeisydd am yr Arlywyddiaeth wedi cefnu ar ei gyfeillion a'i egwyddorion ac wedi rhoddi ei hun yn offeryn yn llaw y Democratiaid, fel y gallont hwy adfeddianu gallu gwleidyddol a chyrhaedd y safleoedd uchaf yn Ngwladlywiaeth America. Dau elyn yn cyfarfod a'u gilydd—un yn barod i yfed gwaed y llall, ond y ddau er mwyn cyrhaedd amcan nas gallasai un gyrhaedd heb y llall yn cyduno i gyhoeddi heddwch! Y ddau elyn hyn ydynt y blaid Ddemocrataidd a Horace Greeley. Yr un amcan sy gan y ddau mewn golwg. Nid oes gobaith i un o honynt gyrhaedd yr amcan hwnw heb gynorthwy y llall, ac y maent yn awr wedi ffurfio undeb llygredig—undeb sydd yn gymaint gwarth i un a'r llall—undeb nad oes ei gyffelyb mewn digywilydd dra yn holl hanes ein gwlad—undeb ag sydd yn gwneuthur gwleidyddiaeth yn chwareu plant ac yn amddifadu y ddwy ochr o bob egwyddor sylweddol—ie undeb a fydd yn sicr o gael ei gondemnio gan y bobl yr etholiad nesaf drwy fwyafrif aruthrol dros Grant a Wilson.

---

## Deg o Resymau Da dros Bleidio GRANT.

1. Mae wedi dangos yn y mynedol, ei fod yn wir gyfaill ac amddiffynydd i'r Undeb.

2. Nid yw erioed wedi bradychu ymddiried, ac ni fu ganddo un *policy* i'w ddirgymhell yn erbyn barn y bobl.

3. Y mae wedi mynu gonestrwydd ac wedi dwyn cynildeb i mewn i weinyddiaeth pob cangen o'r Llywodraeth.

4. Drwy bolisi arianol doeth y mae wedi lleihau y ddyled gyhoeddus uwchlaw tri chant a phedwar-ar-ddeg-ar hugain o filiwnau o ddoleri.

5. Y mae wedi gweinyddu holl ddeddfau y Weriniaeth yn gyfiawn, annhleidiol a chadarn.

6. Mae wedi estyn amddiffyniad y Llywodraeth i bob dinasydd Americanaidd, gartref ac oddicartref.

7. Y mae wedi dangos awyddfryd difrifol i sicrhau llonyddwch a heddwch drwy yr oll o'r Talaethau Deheuol, ac mae wedi gwneyd pob peth o fewn ei allu er eu llwyddiant cyffredinol.

8. Mae wedi diogelu heddwch a'r holl fyd, a thrwy ei lywodraeth ddoeth a rhyddfrydig wedi cadw y wlad ar y telerau mwyaf cyfeillgar a heddychol gyda phrif alluoedd Ewrop.

9. Mae wedi rhoddi prawf ymarferol o'i gydymdeimlad a'i gyfeillgarwch i weithwyr America, ac nid yw un amser wedi esgeuluso unrhyw fantais i'w lleshau.

10. Mae wedi profi ei hun mor alluog mewn heddwch ag ydoedd mewn rhyfel; mor ddoeth a mawrfrydig fel Gwladweinydd ag ydoedd fedrus a chyfiawn fel milwr.

---

ARGRAFFWYD YN SWYDDFA BANER AMERICA,
SCRANTON, PA.

